# HYMNAU,

WEDI EU

CYFANSODDI A'U CASGLU, YN FWYAF NEILLDUOL,

AT WASANAETH

## SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

---

AIL ARGRAFFIAD.

---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS,
GEORGETOWN.

1851.

# RHAGYMADRODD.

---

MAE i bob sect ei Hymnau, yn gystal â'i harferion neillduol. Mae amryw o hymnau yr enwadau ereill yn ddigon cyfaddas i'w canu genym ninnau, eithr nid y cwbl; a chan nad oes un casgliad o hymnau yn yr iaith, wrth yr hwn y gallwn osod ein cymmeradwyaeth dieithriad, nid oedd genym un ffordd i'w dilyn yn amgen, nâ chyfansoddi a chrynhoi ynghyd y cyfryw hymnau ag a ystyriwn yn gyfaddas i'w canu genym yn ein haddoliadau. Dyna yr achos o gyhoeddiad y llyfryn bychan hwn; ac er nad ydym yn ei ollwng allan fel yr uchaf ei ehediadau na'i gywreinwaith barddonol, tybiwn ei fod yn cyd-daraw ag athrawiaeth

ac archwaeth ysbrydol y Saint; a chan obeithio y bydd yn achlysur pleser ac addysg iddynt hwy yn eu cynnulleidfaoedd, ac ar eu haelwydydd, y cyflwynir ef iddynt

Gan eu brawd gostyngedig,

D. JONES.

---

## EGLURHAD O'R MESURAU.

M. C. yw Mesur Cyffredin.
M. C. C. yw Mesur Cyffredin Cymreig, neu Fesur Salm.
M. B. yw Mesur Byr.
M. H. yw Mesur Hir.
M. N. yw Mesur Neillduol.

# MYNEGAI.

# HYMNAU.

## YR YSBRYD GLAN A'I WAITH.

1 M. N. 7, 6.

O Dduw, rho im' dy Ysbryd—
  Dy Ysbryd ddaw a gwres;
Dy Ysbryd ddaw â'm henaid
  I'r nefoedd wen yn nes:
Dy Ysbryd sy'n goleuo,
  Dy Ysbryd sy'n bywhau;
Dy Ysbryd sydd yn puro,
  Santeiddio, a glanhau.

Dy Ysbryd sy'n dadguddio
  Dy heirdd drysorau drud,
Y rhai ni chenfydd llygaid
  Anianol blant y byd:
Dy Ysbryd sydd yn ennyn
  O'n mewn y nefol dân;
A'th Ysbryd pur yn unig
  Sydd yn melysu'r gân.

2 M. C.

Duw, tywallt di yr Ysbryd Glân,
  Yn enw Iesu mawr,
A'i weithrediadau megys tân,
  O danfon ef i lawr.

Tyr'd, Ysbryd santaidd, *ledia*'r ffordd,
Bydd imi'n niwl a thân;
Ni cherdda'i 'n gywir hanner cam
Oni fyddi o fy mlaen.

3 M. C. C.

Ein Duw a'n tirion awdwr hedd,
Mae blas dy wledd yn hyfryd;
Rho brawf digonol i bob un,
O werthfawr rîn dy Ysbryd.

Dy Ysbryd sy'n goleuo'r dall,
A'i wneyd yn gall a phwyllog;
Efe santeiddia deulu dyn;—
O! hyfryd Un godidog.

4 M. H.

O, Arglwydd nef a daear lawr,
Dy Ysbryd Glân rho ini 'nawr;
Fel byddo ein haddoliad ni,
Yn gymmeradwy genyt ti.

Heb hyn nis gallwn gael llesâd,
Yn ein cynnulliad ger dy fron;
Os hyn a wnai, ein nefol Dad,
Bydd yma lawer mynwes lon.

5 M. N. 8, 7, 4.

Duw, cyflawna dy addewid,
Yma'n enw Iesu cu;
Ti addewaist roi dy Ysbryd,
Do, lle byddai dau neu dri,

Yn dy enw, &c.,
 Ninnau'n gynnulledig sydd.
Tywallt ef mewn modd neillduol
 Ar dy saint sydd ger dy fron;
Tywallt ef er mwyn dy enw,
 Yn yr oedfa newydd hon:
O, arosed, &c.,
 Y Dyddanydd gyda ni.

**6** M. C.

Dy Ysbryd di, ein nefol Dad,
 Fo'n wastad gyda ni;
Dyddanydd yw—Tywysydd rhad
 I'r nefol wlad sydd fry;
Ac yn ei law, fy enaid, hed
 Uwch holl blanedau'r nen,
Lle mae fy Nuw, fy Nefol Dad,
 A'm Iesu mâd yn Ben.

**7** M. N. 8, 7.

Arglwydd grasol a thrugarog,
 O'th ddaioni mawr i ni,
Wele'th blant yn gynnulledig,
 Ac yn dysgwyl wrthyt ti;
Rho fendithion ini etto,
 Yn yr oedfa newydd hon;
Rho dy Ysbryd Glân i'n tywys
 Trwy yr anial dir yn llon.

Ysbryd cariad a thangnefedd,
Ysbryd Duw, 'r Dyddanydd cu;
Undeb pur a chyd-weithrediad
Fyddo'n wastad gyda ni:
Boed gogoniant byth a moliant,
Llais a chalon iddo Ef,
Gan bob cerub, dyn, ac angel,
Drwy'r holl ddaear, drwy'r holl nef.

---

## AIL DDYFODIAD CRIST, A'R MIL-FLWYDDIANT.

---

M. B.

Ymdrechaf ymdrech deg,
Nes cyrhaedd pen y daith;
Addawodd Iesu anwyl im',
Na fyddai ddim yn faith.

Fe ddaw yn fuan iawn,
A'i luoedd gydag ef;
Henffych i'r anwyl ddydd a'r awr,
Y daw i lawr o'r nef.

9 M. C. C.

Yn Frenin daear, mawr ei lwydd,
E ddaw yr Arglwydd Iesu:
Dywedodd y prophwydi hyn,
'Rwyf finnau yn eu credu.

Hosanna, haleliwia fydd,
  Heb neb yn brudd bryd hyny;
Henffych i'r amser ddod i ben,
  Teyrnasa'r Brenin Iesu.

Ni ddaeth erioed i galon un,
  A chlustiau dyn ni chlywsant,
Y pethau a ddarparodd Duw
  I'r cyfryw rai a'i carant.

10 M. N. 7, 6.

'Rwy'n canu mewn gorthrymder,
  Wrth feddwl am y dydd,
Pan caf fi o'r caethiwed,
  Ymdeimlo'n hollol rydd:
Pryd hyn y caf fi ganu,
  Heb fethiant byth na thaw,
I'r Hwn fu ar y ddaear,
  Sef hwnw'r eilwaith ddaw.

11 M. N. 6, 8.

Yn awr gorthrymder gawn,
  Ond llawenhawn yn wir;
Dywedodd Duw, "Parhewch,
  Gorphwysfa gewch cyn hir."
I'r amser braf, O croesaw ddod,
Cawn fyn'd a bod yn Seion Duw.

12 M. B.

Mewn dyrus anial fyd,
Yr y'm hyd hyn yn byw;

Henffych i'r waredigaeth lawn,
A gawn yn Seion wiw.
Cawn gwmni'r addfwyn Oen,
A'r teulu llon ynghyd;
O! hyfryd canwn y pryd hyn,
A'n tannau'n dŷn i gyd.

13 M. N. 8, 7.

Melys ganu fydd yn Seion,
Pan y delo'r saint ynghyd;
Melys gwrdd y pererinion,
Fu ar wasgar yn y byd;
Patriarchiaid a phrophwydi,
Apostolion yr un modd;
Dyna'r dydd ceir gwel'd y teulu,
Oll yn canu wrth eu bodd.

14 M. B.

O, hyfryd amser ddaw
I'r saint ar Seion fryn;
Pan drig y blaidd a'r oen ynghyd,
A'r llewpard gyda'r myn.
Y llo a chenaw'r llew,
A'r bras anifail fydd,
Yn cyd-ddigrifo ar y maes,
Mewn heddwch nos a dydd.
Y llew yn ddof a ddaw,
Y gwellt fel ych a bawr,
A llydnod buwch ac arth a gyd-
Orweddant ar y llawr.

Ni ddrygant hwy pryd hyn,
Ar Seion fryn ynghyd;
A hulia, fel y dwfr y môr,
Gwybodaeth Iôr y byd.

15 M. C. C.

Pan adeiladir Seion wiw,
Y disgyn Mab Duw yno,
I lenwi'r saint â'r fywiol ddysg,
Ac yn eu mysg breswylio;
Fel y b'ont addas i fyw byth,
O fewn i'w ddilyth nefoedd,
Gan dalu'r clod i Fab y Dyn,
Ar delyn yn oes oesoedd.

16 M. N, 2, 8.

Braint, braint,
Fydd cael teyrnasu gyda'r saint,
Pan na fydd pechod cas na haint,
O unrhyw faint, i'n blino ni;
Ein hyfryd waith fydd moli'r Oen,
Heb unrhyw boen, yn mhlith y llu.

17 M. N. 7, 6.

Mor hyfryd fydd cyfarfod,
Yn hynod deml Dduw,
I gyd-glodfori'n beraidd
Ei santaidd enw gwiw:
Cymdeithas seintiau ffyddlon,
Cyfeillion cyfiawn cu;

Llonyddwch a llawenydd,
A leinw'r dedwydd dy.

**18** M. C. C.

Dywedwyd llawer am yr Oen,
Ond llai nâ digon etto ;
Gwaith yw moliannu'r Oen dilyth
Na dderfydd byth mo hono.

Pan treulir mil o flwyddi maith,
Wrth hyn o waith yn Seion—
Sef rhoddi perffaith fawl i'r Oen,
Byth ni bydd sôn am ddigon.

**19** M. N. 8, 7.

I Jerusalem a Seion,
Yr ymgasgla'r saint cyn hir ;
Ar elorau meirch a mulod,
Adref i'r hyfrydol dir ;
Yno cânt o bob dyddanwch,
Pleser heb ddim tristwch cas,
Yn nghwmpeini'r addfwyn Iesu,
I roi'r clod i'w ryfedd râs !

**20** M. N. 8au.

Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
Yn eistedd ar orsedd y nef,
I eiriol dros wael ddynol-ryw,
Sef deiliaid ei gu deyrnas ef:
Mi wn y daw atynt cyn hir,
Am fil o flynyddoedd i fyw ;

A'r gelyn a rwymir yn wir,
  Gan Michael, archangel ein Duw.

Hosanna, hosanna trwy'r byd,
  A'r nefoedd i gyd, yr un fraint,
Mab Dafydd fydd Frenin o hyd,
  A'i Ysbryd yn llenwi ei saint:
Gogoniant yr Arglwydd a fydd,
  Ar ffrwynau y meirch yn mhob lle,
A'i demlau gorwychion a rydd
  Adlewyrch gogoniant y ne'.

## 21 M. N.

Henffych i'r amser da sy'n dod,
  Cawn wel'd ein Priod Iesu,
Ar gwmwl gwyn yn fawr ei glod,
Mewn rhwysg rhyfedda' fu erioed,
  Yn dyfod i deyrnasu.

E ddaw 'nol ei addewid gref,
  A'i holl angylion ganddo;
A'r saint a floeddiant uchel lef,
O fawl i Dduw hyd entrych nef,
  Am iddo ef eu gwrando;

A'u dwyn o'r trwm gaethiwed blin,
  Sef Babilon buteinllyd,
I'r wlad lle llifa llaeth a gwin,
Lle gwelir gorsedd Mab y Dyn,
  A'r saint, bob un mewn gwynfyd.

## 22 M. N. 8, 7, 4.

Dyma ffydd y gwir gyfammod,
Ffydd y saint hedasant fry;
Ffydd y ffyddlon apostolion,
A'u harwyddion gyda hi;
Rhad gynnysgaeth, &c.,
Crist ei hun yw ffydd y saint.

Ffydd heb weithrēd yn ei dilyn,
Ffydd heb arwydd wrth ei chefn;
Ffydd heb fywyd ydyw hòno,
Ffydd heb sail o fewn y drefn:
Rhad gynnysgaeth, &c.,
Crist ei hun yw ffydd y saint.

## 23 M. N. 6, 8.

Ar foreu'r Jubili,
Pan ddelo Iesu lawr,
Y saint yn fyrddiwn fydd,
A goleu'r dydd yn fawr;
A'r Brenin ar ei orsedd wèn,
I'r ddaear, fel i'r nef, yn ben.

Yn tramwy Seion ffyrdd,
Bydd engyl fyrdd diri';
A chaiff y gwaelaf saint
Fwynhau eu braint a'u bri;
A'r Brenin ar ei orsedd wèn,
I'r ddaear, fel i'r nef, yn ben.

Holl erlid croes-fyd cras,
Pob surni cas a sèn,

Pob clefyd a phob clwy',
Gânt ffarwel mwy—Amen;
A'r Brenin ar ei orsedd wén,
I'r ddaear, fel i'r nef, yn ben.

Cymmanfa Salem lân,
Mae hòno'n mlaen i ni—
Nid llai nâ mil-flwydd hyd
Ei hoedfa hyfryd hi;
A'r Brenin ar ei orsedd wén,
I'r ddaear, fel i'r nef, yn ben.

Yn mlaen, yn mlaen mi af,
I'r gwynfyd braf a'r gwaith,
At wyr yr ardal wèn,
Sy'n iach ar ben y daith;
A'r Brenin ar ei orsedd wèn.
I'r ddaear, fel i'r nef, yn ben.

## 24 M. C. C.

Pwy â i fynydd Seion Duw,
Y ddinas wiw, i drigo?
Y sawl a rodia'n ngoleu'r dydd,
Sef teulu'r ffydd, ânt yno.

Am fil o flwyddi, yno cânt
Roi glân ogoniant iddo:
Gwyn fyd pe gwawriai'r dedwydd ddydd,
I mi trwy ffydd fyn'd yno.

25 M. N. 8, 7, 4.

O, am undeb a ffyddlondeb,
Cariad, purdeb, ar y llawr,
Wrth ymdeithio o'r caethiwed,
O hen wlad y cystudd mawr,
Tua Seion, &c.,
I gael gwaredigaeth lawn.

Rhag y pläau a'r phiolau,
Sydd i ddod ar fyr i lawr,
I ddystrywio teulu'r butain,
Gyda galanastra mawr,
Arglwydd tirion, &c.,
Gwared y ffyddloniaid oll.

26 M. N. 2, 8.

Mae, mae,
Y mil blynyddoedd yn nesâu;
Caiff plant y deyrnas lawenhau,
A gwir fwynhau danteithion gwiw,
Ar fwrdd eu Duw, a'u nefol Dad,
Yn Seion fâd, ethol-wlad Duw.

Bydd, bydd,
Y ddraig pryd hyn dan sêl yn nghudd,
Ond rhodia saint ein Duw yn rhydd,
Heb neb yn boenus brudd eu bron;
Ond pawb yn llon, ac oll â'u llef,
Fydd IDDO EF, drwy'r deyrnas hon.

27 M. B.

Y seintiau ffyddlon sydd
Yn dysgwyl am yr awr,
Y cânt fyn'd adreu'n llwyr a llon,
I'r eang Seion fawr.

Mae awydd lon'd fy mryd
Am fyn'd i'r hyfryd wlad,
Lle cwrddir pawb yn caru Duw,
Yn llysoedd gwiw eu Tad.

28 M. H.

Er fod y saint ar hyn o bryd
Yn cael o wg a gwawd y byd,
Hwy gânt fwynhau yn hir 'rol hyn,
Ddedwyddwch pur ar Seion fryn.

Mae satan, cnawd, a byd yn awr,
Am rwystro amcan Iesu mawr;
Er hyn ei amcan ddaw i ben—
Ni gawn fwynhau'r freniniaeth wên.

A thyma'm hiraeth penaf i,
Yw am roi'r clod, a'r parch, a'r bri,
A'r deyrnas a'r coronau gyd,
I'm brawd sy'n Frenin penaf byd.

29 M. N. 7, 4.

Beth yw'r swn a'r synu sydd,
A'r ymroad?
Duw sy'n cloddio'r meini cudd
I'r adeilad:

Casglu mae ei blant o bell,
I swpera,
Ac i fyw mewn gwlad sydd well,
Haleliwia.

Moli yno gânt yr Oen,
A'i ddyrchafu,
Oll ynghyd mewn hyfryd hoen,
Heb wasgaru ;
Yno llifa'u gwledd yn llawn
O lawenydd,
Hwyr a boreu, a phrydnawn,
Gyda'u gilydd.

**30** M. N. 8, 7.

Dim ond taith o bererindod,
Sydd i ffyddlon weision Duw,
Drwy orthrymder ac helbulon,
Ar y ffordd i Seion wiw.
Gwell yw myn'd trwy orthrymderau,
Tua'r hyfryd wlad sydd draw,
Na bod gyda'r Babiloniaid,
Yn yr amser trwm a ddaw.

**31** M. N. 6, 7.

Cawn, cawn gymdeithas gu
Prophwydi, apostolion,
A'r hen ffyddloniaid fu
A'u traed ar fynydd Seion :

Cawn gwmni'r Iesu mwyn,
Dros fil ddigwyn o flwyddi;
A thelyn pawb mewn hwyl,
Drwy'r hirfaith wyl heb dewi.

32 M. N. 6, 8.

A heibio'r dywell nos,
A ffy cymylau'r nen;
Daw, daw'r addewid wir,
A'i geiriau pur i ben;
Ceir gwel'd, ceir gwel'd yr hyfryd dir,
Ar fyr o dro yn oleu clir.

33 M. N. 8, 7, 4.

Dros y bryniau tywyll niwlog,
'N dawel, f'enaid, edrych draw;
Addewidion sydd i esgor—
Mae rhyw ddyddiau braf gerllaw;
Nefol Jubil, &c.,
Gad i'm wel'd dy foreu wawr.

34 M. C.

Plant ydym etto dan ein hoed,
Yn dysgwyl am ein 'stad;
Mae'r etifeddiaeth ini'n dod,
Wrth destament ein Tad.
O, hyn fydd yn hyfryd,
Hyfryd, hyfryd, &c.,
Cael cwrdd yn Seion wiw, &c.&c.
Cawn yno gwrdd oddeutu'r bwrdd,
Sef cwrdd wrth fwrdd ein Duw.

Ac nid angylion byth, na saint,
Nid tafod neb sy'n fyw,
All ddod i ben â thraethu maint,
Cynnysgaeth teulu Duw.
O, hyn fydd yn hyfryd, &c.

## SWPER YR ARGLWYDD.

35 M. C.

Mor hyfryd meddwl am y Gwr
Fu'n dyoddef ar y groes;
Mae'n dysgwyl i ni wneuthur hyn,
Er cofio am ei loes.

O, hyn sydd yn hyfryd,
Hyfryd, hyfryd, &c.,
Gan bawb sy'n caru Duw, &c.
Mae mwy o hedd yn rhin y wledd,
Na dim ar dir y byw.

36 M. B.

Mae gwaed y groes a'i rîn,
Yn addas destun cân;
Aed rhinwedd hwn trwy'r byd yn grwn,
I olchi'r brwnt yn lân.

Gogoniant trwy bob gwlad,
Am rinwedd gwaed yr Oen;
Yr angeu drud fo'n destun byd,
Ar gân, mewn hyfryd hoen.

**37** M. H.

Gorch'mynodd Iesu Grist ein Pen,
I gofio ei angeu trist ar bren—
"Cynnifer gwaith bwytaoch chwi,
Gwnewch hyn er cof am danaf fi."

Arwydda yr elfenau hyn,
Y cnawd a'r gwaed fu ar y bryn;
Diolchwn a chlodforwn Dduw—
Mae'r Oen a laddwyd etto'n fyw.

**38** M. C.

Cyd-roddwn fawl i'n Harglwydd glân,
 Dadseiniwn gân o glod,
Am garu rhai mor wael â hyn,
 A'n cofio cyn ein bod;

A chario 'n ufydd ei groes bren,
 I ben Calfaria fryn;
A marw'n llon, a myn'd i'r bedd:
 O, ryfedd râs yw hyn!

**39** M. C. C.

Mae'r gwaed a lifodd ar y groes,
 O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn,
 I ddweyd yn iawn am dano.

**40** M. C. C.

Nid bara a gwin daearol, gwan,
 A bortha'r rhan ysbrydol;

Nid ynt i ffydd ond arwydd dda
O Grist, y bara bywiol.

Ei gnawd a'i waed sydd ymborth pur
I'r nefol natur newydd;
Ond gwledda arno, ni gawn fyw
Fry gyda Duw'n dragywydd.

---

## CARIAD A BRAWDGARWCH.

---

**41** M. N. 8, 7.

Pe llefarwn â thafodau
Dynion ac angylion cu,
Ac heb feddu cywir gariad,
Nid yw ddim llesâd i mi;
A phe meddwn brophwydoliaeth—
Gwybod pob dirgelion sy,
Ac heb feddu cywir gariad,
Nid yw ddim llesâd i mi.

Pe gwybyddwn bob gwybodaeth,
Pe'r holl ffydd yn eiddo im',
Pe symudwn faith fynyddau,
Heb wir gariad nid wyf ddim;
A phe gallwn borthi'r tlodion,
Rhoi fy nghorff i'w losgi'n ddu,
Ac heb feddu cywir gariad,
Nid yw ddim llesâd i mi.

42 M. N. 8, 7, 4.

Cariad sydd yn hir ymaros,
Ac yn gymmwynasgar iawn;
Cariad nid yw'n cenfigenu,
Nac ymffrostio mewn un ddawn;
Nid ymchwydda, &c.,
Ac ni chais yr eiddo'i hun.

43. M. C. C.

Cariad a odde'n ymarhous,
Nid yw gyffrous i ddigio;
Maddeu'r presennol gamwedd mae,
Anghofio'r bai aeth heibio.

A hunan-les yn llon ymâd,
Er mwyn llesâd cymmydog;
Gan gofio Crist a ddaeth i'r groes,
I farw dros yr euog.

Hwn ydyw'r gras yn fyw a fydd
Yn ngwledydd y gogoniant;
Lle na bydd ffydd na gobaith mwy,
Y saint byth hwy a garant.

44 M. N. 7, 6.

Y cariad sydd yn cuddio
Pechodau rif y gwlith,
A fyddo yma'n wastad,
Yn helaeth yn ein plith;

Mae'n fwy na ffydd nâ gobaith,
Na doniau llawn y ty ;
Gwir gariad a brawdgarwch,
Fo'n wastad gyda ni.

**45** M. N. 7, 4.

Cariad brawdol yma boed,
Yn cynnyddu,
Gan bob graddau a phob oed,
Fel un teulu :
Cwlwm y tangnefedd pur
Yma fyddo,
Tra bo'r saint yn myd y cur,
Yn ymlwybro.

Arglwydd tirion, dyro 'nawr,
Ini'th Ysbryd,
Fel y gallom, fach a mawr,
Ganu'n hyfryd ;
A gweddio yn gytun,
Gyda thaerni,
Am fendithion i bob un,
Er mwyn Iesu.

**46** M. N. 8, 7, 4.

Ysbryd cariad a brawdgarwch
Ydyw Ysbryd pur ein Duw ;
Ffrwythau ydynt sydd yn tarddu
Oddiar yr ernes wiw;
Hwn a fyddo, &c.,
Y ein tywys ar ein taith.

## YR EFENGYL.

---

**47** M. C.

Aed yr efengyl bur ar led,
Trwy barthau'r byd o'r bron;
Boed llwyddiant trwy bob gwlad a thref,
Lle mae pregethiad hon.

O'r Fabilon doed myrdd yn awr,
I 'mofyn am y gwaed
A lifodd ar Galfaria fryn,
I olchi'r dua' gaed.

**48** M. N. 10, 8.

Efengyl yr Oen am dani boed son,
Trwy'r broydd a'r bryniau o'r bron;
Hen Babilon fawr ddaw'n fuan i lawr;
Mae'r udgyrn yn bloeddio uwch ben.

**49** M. N. 6, 4.

Efengyl, hed yn awr,
Ar edyn cerub mawr,
O fôr i fôr;
Paganiaid ddelo'n llu,
Pob math, yn wyn a du,
I foli'r Iesu cu,
Ein Harglwydd Iôr.

Efengyl teyrnas nef,
A lanwo wlad a thref,
A'r eang fyd;
Doed miloedd o bob gwlad,
I brofi rhîn y gwaed,
Gan 'mofyn am iachâd,
Yn awr mewn pryd.

**50** M. C.

Anwylaf Dad, O llwydda di,
Bur genadwri'r Nef,
Nes llanwo gwir wybodaeth rad
Bob ardal, gwlad, a thref.

**51** M. N. 9, 8.

Y gareg a dorwyd o'r mynydd
Yn fuan a leinw'r holl fyd;
Ymdreiglo y mae trwy'r teyrnasoedd,
A'r moroedd mawr eang i gyd:
Hi ddryllia holl ddelwau'r paganiaid
Yn chwilfriw i'r ddaear ynghyd;
Helaethed gwir deyrnas y gareg,
Nes cyrhaedd o gwmpas y byd.

**52** M. N. 8, 7, 3.

Arglwydd, anfon dy efengyl,
Heddyw yn ei rhwysg a'i grym;
Dangos fod dy lais yn gryfach,
Nas gall dyn wrthsefyll ddim;

Tyr'd yn mlaen, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân.

53 M. B.

Aed swn efengyl hedd,
Trwy barthau'r ddaear gron;
Na fydded ardal dan y nef,
Heb yr efengyl hon.

Dychweled caethion fyrdd,
Addolwyr duwiau gau,
I gyd i gredu'n Iesu Grist,
Ac iddo ufyddhau.

54 M. N. 11au

O, erglyw fy ngweddi, fy Arglwydd a'm Duw,
Ar ran y trueiniaid mewn t'wyllwch sy'n byw:
A llwydda efengyl y deyrnas o hyd,
I fyned ar gynnydd nes llenwi'r holl fyd.

55 M. N. 8, 7.

Yr efengyl am y deyrnas
A bregethir trwy'r holl fyd,
Er tystiolaeth i'r cenedloedd
Sydd ar wasgar ar ei hyd;
Wedi hyny fe ddaw'r diwedd,
Babilon a syrth i lawr;
Iesu Grist a fydd yn Frenin,
Yn mhob man a lle yn awr.

**56** M. N. 8au.

Efengyl y deyrnas yw hon,
O llanwed bob mynydd a lle;
Dychweled y gwledydd o'r bron
I gredu Etifedd y Ne':
Ei eiriau sydd eirwir i gyd;
Ni syflant—hwy safant yn syth;
Y ddaear â heibio ryw bryd,
Ond geiriau Mab Duw a saif byth.

**57** M. N. 8, 8, 8, 6.

Dyrchafer baner goch y groes,
A seinier haeddiant marwol loes,
A ffoed cysgodau'r dywell nos,
O gwmpas daear fawr;
A ed sain efengyl drwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachâd,
Ac yna tyr'd i lawr.

**58** M. N. 8, 7.

Arglwydd, llwydda dy efengyl,
Yn ein dyddiau rhyfedd ni;
Dyro'th Ysbryd i'th swyddogion,
Fel y gallont dystio'n hy;
Fel pregethont i'r gwrandawwyr,
Fel gwrandawont hwythau'n iawn;
Yna credu, a'u bedyddio,
A chael rhyw ysbrydol ddawn.

**59** M. N. 6, 8.

Efengyl teyrnas nef
A lanwo'r eang fyd;
Doed lluoedd gwlad a thref
Yn ddeiliaid iddi i gyd;
Mae hon yn addas i bob un—
Ei Brenin ydyw Mab y Dyn.

**60** M. N. 8, 7, 4.

Yr efengyl hon ehedo
I bob parth o'n daear ni;
Doed â miloedd a myrddiynau
I adnabod Iesu cu,
Fel bo'r moliant, &c.,
A'r gogoniant byth i Dduw.

**61** M. N. 11au.

Efengyl y deyrnas sydd addas i ni,
Efengyl dragwyddol ragorol yw hi;
Mae ganddi fendithion—arwyddion a wna
I ganlyn ei deiliaid, lle bynag yr â.

Ei Brenin—godidog, ardderchog iawn yw,
A'i dewrion swyddogion, anfonwyd gan Dduw:
Cyfreithiau a doniau di-newid a fedd;
Mae'n werth i ddod iddi, cyn myned i'r bedd,

**62** M. N. 7, 8, 7.

Efengyl teyrnas nefoedd
  A ledo trwy'n hardaloedd ;
Aed hon ar frys trwy'r byd o'r bron,
  A llon ddychweled luoedd.

I lawr yr elo'r delwau,
  A'r dynol draddodiadau ;
A hon a fo'n unionu'r gŵyr,
  Yw'm gweddi hwyr a boreu.

**63** M. N. 8, 7, 4.

Diolch byth i Dduw y nefoedd,
  Am ei fawr drugaredd râd,
Pan anfonodd ei efengyl
  Santaidd, nefol, idd ein gwlad :
O, anfoned, &c.,
  Hon i gonglau pella'r byd.

Ynddi mae bendithion gwerthfawr,
  Gydag Ysbryd Duw ei hun ;
Ernes yw o'r etifeddiaeth,
  A bod digon i bob ún :
O, anfoned, &c.,
  Hon i gonglau pella'r byd.

**64** M. C.

Ehedeg mae'r efengyl fwyn,
  I bob rhyw barth o'r byd ;
Yn fuan iawn bydd hon yn ben,
  Trwy'r ddae'r a'r nen ynghyd,

O, henffych i'r amser, &c.,
Pan fydd gwybodaeth Ior,
Yn toi ein tir, er lles yn wir,
I bawb ar dir a môr.

65 M. N. 5, 7, 9.

Molwch yr Arglwydd,
Molwch yr Arglwydd,
Molwch yr Arglwydd yn fawr;
Daeth ei bur efengyl rad,
Unwaith etto idd ein gwlad,
Ac fe gaiff oruchafiaeth yn awr.

Iesu a'i rhoddes,
Iesu a'i rhoddes,
Trwy ddadguddiad rhoes i ddyn;
Fe'i haddawodd yn ddifreg,
Ar yr unfed awr ar ddeg,
Ac fe'i rhoddodd er lles i bob un.

66 M. N. 7, 6.

Y boreu a aeth heibio,
A'r drydedd awr o'r dydd;
Y chwechfed awr, a'r nawfed,
Ynt heibio 'nawr yn nghudd;
Ond diolch yr wyf etto,
Am i'm gael cyfle teg
I fyn'd i winllan Iesu
Yr unfed awr ar ddeg.

Mae'n amser i gyflogi
I winllan Duw yn awr;

Pwy bynag a ddaw iddi,
Gaiff etifeddiaeth fawr;
Caiff Feistr digyffelyb,
A gwobr fawr o hyd;
Caiff gadw'i unig enaid,
Sydd fwy ei werth nâ'r byd.

**67** M. N. 10, 8.

Efengyl Mab Duw, di-newydd byth yw,
Mae hon fel ei Hawdwr ei hun;
Mae'n sylwedd i gyd, i loni fy mryd,
A gwneyd Duw a minnau yn un.
Gogoniant f'o byth i'm Harglwydd dilyth,
A'm roddi'r fath fendith a braint;
Caf ddyfod a byw, yn nheyrnas Mab Duw,
A'm cyfrif yn llechres ei saint.

**68** M. N. 7, 4.

Bum heb Dduw o fewn y byd,
Na thrugaredd;
Duw o'i râs a ddaeth mewn pryd
Ag ymgeledd:
Yn y bur efengyl hon
Ymddiriedaf,
Ac o gylch ei bwrdd, yn llon,
Bythol ganaf.

**69** M. N. 5, 7, 9.

Ceisiwch y deyrnas,
Ceisiwch y deyrnas,
Ceisiwch yn awr deyrnas Dduw;

Ac ymdrechwch nes ei chael,
A'i hadnabod yn ddiffael; —
Ei Rheolwr, yr Ail Adda yw.

Ceisiwch yn ddyfal,
Ceisiwch yn ddyfal,
Ceisiwch a chalon ddifai;
Ei hammodau ydyw ffydd,
Edifeirwch, calon brudd;
Yna bedydd, er maddeu pob bai.

Diolch i'r Arglwydd,
Diolch i'r Arglwydd,
Diolch i'r Arglwydd, ein Duw;
Cewch o ddawn yr Ysbryd Glân,
Idd eich tywys yn y blaen,
Ac yn ernes o nefoedd i fyw.

**70** M. N. 8, 7, 4.

Taened gweision Brenin bywyd,
Iechydwriaeth Crist ar led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred:
Aed efengyl, &c.,
Ar adenydd dwyfol wynt.

Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed pob llwyth, ac iaith, a phobl,
At y gwleddoedd hyfryd hyn;
Y mae croesaw. &c.,
A chyflawnder ar y bwrdd.

**71** M. N. 8, 7, 4.

Llwyddiant i'r efengyl nefol,
Cenadwri rasol Duw,
Gair yr iechydwriaeth dirion,
Llawn bendithion odiaeth yw;
Llwyddiant beunydd, &c.,
Ar y bur efengyl hon.

Pawb a gredant a gânt brofi
Mai sylweddol ydyw'r ddawn,
Trwy dderbyniad yr addewid,
Sydd yn ei phregethiad llawn:
O, na ddeuai, &c.,
Teulu dyn i gyd yn mlaen.

**72** M. N. 7, 4.

Gan fod yr efengyl bur,
A'i thystiolaeth,
Gyda sicrwydd mawr yn wir,
Mewn bodolaeth:
Brysio wnelo'n ben y byd,
Yw fy ngweddi,
Nes bo'r broydd a'r bryniau i gyd,
Yn ei moli.

**73** M. C. D.

O, cenwch fawl i Iesu gwiw,
Mab Duw, y Meddyg mawr;
Mae'n deilwng o bob mawl a chlod,
Am iddo ddod i lawr,

I draethu ei efengyl râd,
I'r Iuddew mad er budd;
Iachaodd eu harchollion hwy,
A hyny trwy eu ffydd,

## 74 M. N. 8, 7.

Gwelodd Ioan angel dysclaer
Yn ehedeg yn y nef,
A'r efengyl fawr dragwyddol,
Yn ei wèn ddeheulaw ef;
I'r holl lwythau ei pregethwyd,
Ieithoedd, pobloedd, bach a mawr,
Holl breswylwyr tònawg foroedd,
Holl breswylwyr daear lawr.

Gwaeddodd â llef uchel, uchel,
"Ofnwch Dduw, O ofnwch 'nawr:
Rhoddwch iddo ef ogoniant,
Canys daeth ei farn i lawr;
Deuwch oll a gwir addolwch;
Deued daear, deued nef,
Nid oes llechu, nid oes aros,
Rhag ei ymddangosiad Ef!

## 75 M. H. D.

Boed i'th efengyl, Iesu mawr,
Ymledu dros y ddaear lawr;
Ei hyfryd sain a'i goleu clir,
Fo'n amlwg yn yr anial dir;
Fel byddo i'r cenedloedd oll,
Ymgasglu ynghyd, heb un ar goll;

Iuddewon hefyd yn gytun,
I gyd i foli Mab y Dyn.

## I'W CANU MEWN CYNGHOR.

**76** M. N. 8, 7.

O, mor deg yw gweled brodyr,
Mewn tangnefedd yn gytun
Oll yn ddeiliaid cred a bedydd,
Fel y d'wedodd Crist ei hun;
Wedi cael eu hawdurdodi
I'r holl swyddi ganddo ef,
A'r arwyddion oll yn canlyn,
Yn ol cynllun Brenin nef.

Bwriant allan bob cythreuliaid,
Codant ymaith seirff yn fyw,
A llefarant â thafodau,
'Nol arweiniad Ysbryd Duw:
Ar y cleifion rhoddant ddwylaw,
Ac yn iach y byddant mwy;
Ac os yfant ddim fo'n farwol,
Ni wna niwed iddynt hwy.

**77** M. N. 7, 4.

Rho dy Ysbryd, Arglwydd cu,
Idd ein blaenor,
Ac i bob rhyw swyddog sy
Yn y cynghor;

Fel y byddo'n cynghor oll,
Yn fendithiol,
Er cynllunio cael o'r coll,
Rai i'th ganmol.

## 78 M. H.

Trwy gadw y cynghorion cu,
Bendithion ddaw o'r nef i ni;
Cawn ddoniau ddigon ar y daith,
A myn'd i'r nef heb fod yn faith.

## 79 M. C. C.

Er mwyn dy enw, Arglwydd mawr,
O, dere lawr i'n cynghor;
Ac aros hefyd, Arglwydd cu;
Nis gallwn ni dy hebgor.

Heb ini gael'yr Ysbryd hwn,
Nis gallwn ymgynghori;
Na 'chwaith draddodi'r gair yn bur,
Pan byddir yn pregethu.

---

# DUW A'I AIR.

---

## 80 M. N. 7, 6.

Pa dduw yn mhlith y duwiau
Sy'n debyg i'n Duw ni—

Yn hoffi maddeu beiau,
Yn hoffi gwrando'n cri?
Nid hir y deil digofaint,
Gwell ganddo drugarhau;
Yn nghanol byd o drallod,
Gwnawn ynddo lawenhau.

## 81 M. C. C.

Gair Duw sydd wir safadwy oll,
Heb unrhyw golled ynddo;
A gredo hwn, caiff drysor drud,
Nas gŵyr y byd am dano.

## 82 M. B.

O fewn i'r Bibl pur,
Mae eglur feddwl Duw;
Pob iot o hwn a bery'n hwy,
Nâ'r nef—gwirionedd yw.

## 83 M. N. llau.

Fy mhlant, byddwch ffyddlon tra bo'ch ar y llawr.
Gweddiwch yn ddiwyd, bod mynyd, bob awr;
A sefwch yn dystion i mi tra fo'ch byw,
Ac yna cewch orphwys yn mynwes eich Duw.

84 M. H.

Yn llyfr grâs, fy nefol Dad,
'Rwy'n cael o'm blinder esmwythâd;
Gwel'd 'rwy'n mhob dalen iddo bron,
Wyneb a gwên fy Mhrynwr llon.

Hwn ydyw'r maes, o'i chwilio'n iawn
Y gwerthfawr Berl cuddiedig cawn;
A'r unig wir farsiandwr doeth
Yw'r hwn a bryn fath berlyn coeth.

O hwn daw santaidd ddw'r i maes,
All dori syched pechod câs:
Yma tyf Pren gwybodaeth llawn,
Heb niwed ynddo os bwytawn.

O boed i'th air, alluog Dduw,
Gyfeirio'm traed tra byddwyf byw,
A'm tywys i'r wlad nefol fry,
Trwy daith y glyn wylofus du.

85 M. N. 8, 7.

Yma boed fy myfyrdodau
Ar drysorau goreu'r gair;
Dawn ac iechyd i fy ysbryd,
Grym a bywyd i mi bair;
Mi anturiaf oll a feddaf
Ar y gair cadarnaf gwiw,
Cwyd fi fyny, ceidw f'enaid,
Mae fy nodded yn fy Nuw.

**86** M. C.

Y gair sy'n dangos grâs ein Duw,
Anfeidrol yw ei faint;
Cawn yma wel'd cyfiawnder Crist,
I'r enaid trist yn fraint.

Hwn yw ein hymborth pur, dilys,
A'n lluniaeth melys yw;
Holl foethau daear byth ni chair
Yn debyg i air Duw.

Er chwilio'r greadigaeth fawr,
A'i thrysor dirfawr hi,
Gwael ydyw golud byd a'i lwydd
Wrth air ein Harglwydd ni.

---

## EGWYDDORION, AC ORDINHADAU.

---

**87** M. C.

Mae egwyddorion pur y saint,
A'u cydsain yn gytun,
Yn rheol bywyd i bob rhai;—
'Does achos gwadu'r un.

Mae pob gorchymyn roddodd Crist
Yn haeddu'r unrhyw barch,
O oes i oes, gan hir barhau;
Rhaid ufyddhau i'w arch.

O! na wrthoder un o'r rhai'n;
  Efe ei hun a dd'wed,
Nas gellir derbyn unrhyw ddawn,
  Heb roddi ynddo gred?

**88** M. N. 7, 6.

Ordeiniwyd ordinhadau,
  O fewn yr eglwys wir,
Y swper fendigedig,
  Ac arddod dwylaw pur;
A bedydd er maddeuant,
  I'r edifeiriol ddyn;
Ac yna dawn yr Ysbryd,
  Yr ernes fawr ei hun.

**89** M. N. 8, 8, 6.

Mae'r dyfroedd yn y bedydd mâd,
A'r gwaed sydd yn yr ordinhad,
  Ordeiniodd Crist ei hun;
A'r Ysbryd Glân sydd yn ei saint,
Yn dwyn tystiolaeth er ein braint,
  Fod Duw a'i waith yr *un*.

**90** M. C.

Mor fuddiol yw y gair a ddaeth
  Trwy ysbrydoliaeth Duw!
Athrawiaeth hwn sydd ddidwyll oll,
  A llusern ddigoll yw.

91 M. B.

Y gwaed a lifodd ar y bryn,
  A ylch yn wyn a glân,
Oddiwrth bechodau mwy'n bod,
  Rifedi'r tywod mân.

---

## MARWOLAETH, ADGYFODIAD, A BYD ARALL.

---

92 M. C. C.

Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd,
  A dedwydd y bydd farw;
Fe'i cleddir yn ei wely pridd,
  A chlodfawr fydd ei enw.

Fe'i gwelir etto ar y làn,
  Yn hollol anllygredig;
Ac fe deyrnasa is y nen,
  Medd Iesu bendigedig.

93 M. C. C.

Pan ballo ffafr pawb a'u hedd,
  Duw o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn frawd, yn ffrynd a fydd,
  Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

94 M. N. 8au:

Am dòri gorchymyn y nef,
  Marwolaeth osodwyd i ddyn;
Ac yna fod barn arno ef,
  Yn ol ei weithredoedd ei hun:
Mae marw yn chwerw i rai;
  Ond marw sydd elw a braint
I'r cyfryw a rodia'n ddifai,
  Wrth reol gynhenid y saint.

95 M. N. 8, 7.

Ioan glywodd lef o'r nefoedd,
  Yn dywedyd yn ei glust,
Ysgrifena, Gwynfydedig
  Fydd y meirw mwy yn Nghrist,
Medd yr Ysbryd, &c.,
  I gael gorphwys ar y daith.

96 M. N. 7, 6.

Ar fyr daw dydd yr Arglwydd,
  I godi'r saint o'r bedd;
Fe fydd yr holl ffyddloniaid—
  Pob enaid ar ei wedd:
Cânt wisgo gynau gwynion,
  Fel heirdd angylion Duw,
Bob un ar wedd ei Briod,
  Yn seinio clod i Dduw.

O! aiff rhyw dorf aneirif,
  I'r awyr fry i'w gwrdd;

Cyn hir hwy oll ddychwelant,
I wledda ar ei fwrdd.
Fe ddisgyn ar y mynydd,
Nes hollti hwnw'n ddau;
A gwawr y mil blynyddau,
Fydd yna'n hoff nesâu.

## 97 M. N. 2, 8.

Byw, byw,
I mi yn wir yw Crist a'm Duw;
Ac yna marw elw yw,
I bawb sy'n byw i Dduw trwy ffydd;
Er bod ar lawr, hwy ânt i'r làn,
Ac yn y fan cânt fyn'd yn rhydd.

## 98 M. C. C.

Mae meddwl am y nefol wlad
Yn hyfryd a dymunol,
Gan bawb sy'n ymdaith trwy wir ffydd,
I'r ddedwydd drigfa nefol.

Ffyddlondeb, undeb, cariad dwys,
Sy'n y baradwys uchod;
Heb unrhyw loes, na chroes, na chur,
Ond pawb yn bur heb bechod.

Pêr-ganant fawl i Dduw a'r Oen,
Heb unrhyw boen i'w blino;
Hiraethu mae fy nghalon i,
Am fyned tuag yno.

**99** M. N. 8, 8, 8.

Chwi, weision Duw, molwch chwi'r
  Oen,
Molwch ei enw â llafar dôn;
  Bendigedig fyddo'i enw Ef:
O godiad haul hyd fachlud dydd,
Mawr enw'r Oen moliannus fydd,
  Yn y byd hwn, ac yn y nef.

**100** (*Anthem.*)

Y cyfiawn drig yn y nef,
  Gyda Duw a'r Oen,
Yn rhoddi'r clod i Dduw am ei râs,
  A'i fawr gariad rhad:
Pan wedi cyrhaedd pen eu taith,
Gyda'r seintiau canant geinciau,
Nefol odlau, o fawl i Dduw,
  Am eu cadw'n fyw.

---

## MOLIANT I'R ARGLWYDD.

---

**101** M. N. 5, 7, 9.

    Molwch yr Arglwydd,
    Molwch yr Arglwydd,
Molwch yr Argwydd mewn pryd;
  Y mae ei ddaioni mawr,
  Atom ni bob mynyd awr,
Yn ein cymhell i'w foli o hyd.

Mae ei angylion,
Fodau gorwychion,
Oll yn ymgrymu i lawr,
Gan ei bur addoli Ef,
Heb ddim blinder, yn y nef—
Eu tangnefedd a'u cariad yn fawr.

**102** M. N. 11au.

Yr awrhon i'r Arglwydd, yr hwn sy'n ein dwyn
I wybod ei gariad, yn marw er ein mwyn;
Y bo gostyngedig anrhydedd is nen,
A mawl a gogoniant amgenach uwchben.

Oddiwrth ein pechodau a'n beiau bob un,
Fe'n golchodd ni yn ei waed gwerthfawr ei hun;
A gwnaeth ni'n freninol offeiriaid, gwir yw,
A dygodd ein henaid yn agos at Dduw.

**103** M. N. 6, 8.

Y nefoedd gyda ni
A gân am Galfari,
Yn dorf ddiri', ryw anthem lân;
Doed holl derfynau'r byd,
Pob llwyth ac iaith ynghyd,
O'u bodd i ddysgu'r gân.

Cân yw am farwol glwy',
Ni fedd y nef ei mwy;
Caed bywyd trwy ei angeu drud;

Adseinia'r nefol wlad
Am iechydwriaeth rad,
Cân am y gwaed fydd hon i gyd.

## 104 M. C. C.

Welo'r gogoniant mawr a fedd
Yr Oen ar orsedd nefoedd;
Par'towch i'w enw newydd gân,
Na cha'dd o'r blaen ei hadrodd.

Boed i henuriaid blygu o'i flaen,
A'r eglwys lân addoli;
A'u phiolau'n llawn aroglau per,
A'u tannau'n mwynber foli.

Mewn cof y mae gweddiau'r saint,
A'r hymnau maent yn ganu;
Hoff yw eu mawl gan Iesu mwyn,
A gwrando'u cwyn mae'n garu.

## 105 M. C.

Tydi wyt deilwng o fy nghân,
Fy Nghrewr a fy Nuw;
Dy ddoniau o fy amgylch maent,
Bob mynyd 'rwyf yn byw.

O na foed tafod dan y rhod
Yn ddystaw am dy waith;
Mynegaf finnau hyd fy medd,
Dy holl ddaioni maith.

Diolchaf am dy gariad cu
  Yn estyn hyd fy oes,
Diolchaf fwy am un a fu
  Yn gwaedu ar y groes.

**106** M. C. C.

Tydi wyt Dduw mewn awr o bwys,
  Sy'n gwrando dwys ochenaid,
Atolwg, Arglwydd, clyw fy llef,
  Dwg fi i'r nef fendigaid.

Ti fuost i'm yn noddwr hael
  Drwy gyflwr gwael marwoldeb;
I'th foli di, O Arglwydd da,
  Rhy fyr yw tragwyddoldeb.

**107** M. N. 5, 6.

  Trwy'r byd y bo sôn
  Am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu
  Mai "Teilwng yw'r Oen."

  Fy Mhriod a'm Pen
  A rwygodd y llen;
Ffordd newydd a bywiol
  Sy i fyned uwch nen.

  Mor felys y wledd
  Fydd gweled hoff wedd
Fy Mrenin a'm Prophwyd,
  Mwyn hyfryd mewn hedd.

**108** M. N. 6, 8.

Rho'wn fythol glod i gyd
I'r Tad a'i gariad cu,
Am holl gysuron byd,
Ac am well gobaith fry;
O'i fynwes rhoes ei Fab ei hun
I farw dros anwiredd dyn.

Gogoniant a mawrhad
I'r Mab perthynu mae,
Fe'n prynodd drwy ei waed
Oddiwrth dragwyddol wae;
Yn nef y nef teyrnasa'n awr,
A gwel'd mae ef o'i lafur mawr.

I Dduw, yr Ysbryd Glân
Rho'wn fythol gân bob rhyw;
Trwy rym ei râs mae'n gwneyd
Yr enaid marw'n fyw;
Amcanion Crist mae yn gwblhau,
A'r enaid trist mae'n lawenhau.

**109** M. C. C.

Rho'wn glod i'n Harglwydd glân,
Mewn hyfryd gân anfarwol;
Dadseinier drwy'r holl ddaear faith
Ei râs a'i waith rhyfeddol.

Y Tad, mewn pryd, o'i fodd,
Anfonodd ei Anwylyd,

I'n codi ni, druenus rai,
O bydew gwae a gofid.

Gras lanwai'r fainc i gyd,
Gostegai'r llid yn hollol,
Pan y daeth Crist â phardwn pur,
I wrthryfelwyr marwol.

## 110 M. N. 8, 7.

Testun penaf fy myfyrdod
Fyddo Crist a'i farwol glwy';
Yna ni wna byd o drallod
Ddifa cysur f'enaid mwy;
Aros wrth ei groes yn gysson
Edrych arno'n rhoddi'r Iawn,
Hyn a darfa fy ngelynion,
Hyn a rydd im' heddwch llawn.

## 111 M. H.

Dysg fi, O Dduw, dysg fi pa fodd;
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd;
Dysg fi ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg fi goncro 'mhechod oll.

## 112 M. N. 7, 6.

Angylion ddo'nt yn gysson,
Rhifedi gwlith y wawr;
Rhont eu coronau euraidd
O flaen y fainc i lawr.

Dadseiniant eu telynau,
 Ynghyd â'r saint bob un;
Byth, byth ni chanant ddigon
 Am Dduwdod yn y dyn.

## 113 M. N. 8, 7, 4.

Mawr a rhyfedd yw'th weithredoedd,
 Hollalluog, unig Dduw;
Cyfiawn yw dy ffyrdd a chywir;
 Pen y saint wyt, Iesu gwiw;
Pwy ni'th ofna, &c.,
 Ac ni'th ogonedda di?

Ti yn unig ydwyt santaidd,
 A'r cenedloedd oll ddaw'n llon,
Tua Seion, dinas Joseph,
 I addoli ger dy fron;
Am egluro, &c.,
 Am egluro'th farnau di.

## 114 M. N. 8, 7.

Boed i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
 Un Duw hyfryd diwahan,
Gael yn barchus felys foliant
 A gogoniant fyth ar gân;
Fel yr oedd o dragwyddoldeb,
 Mae mewn undeb hyd yn awr,
Bob heb ddim cyfnewidioldeb,
 Fydd i dragwyddoldeb mawr.

## CANIADAU CYNNADLEDD.

### 115 M. N. 8, 7.

Y gynnadledd hon genedlo,
Fwy o gariad at y gwaith,
A ffyddlondeb a phwysigrwydd,
A diddigrwydd ar y daith:
Croes awelon ac ystormydd,
Sydd yn aml ar y llawr;
Ond boddlonwn i'r triniaethau—
Buan y cawn freintiau mawr.

Gweled yno gawn ein tadau,
Fu'n dyoddef mwy nâ hyn,
O erlidiau a merthyrdod,
Oll yn iach ar Seion fryn:
Ni gawn ganu " Buddygoliaeth
Ar bob gelyn, cyn bo hir;
Henffych, henffych, ddedwydd amser,
Am dy weled wyf yn wir.

### 116 M. N. 8, 7.

O, mor hyfryd gan y gweision,
Wel'd y brodyr yn gytun,
Mewn cynnadledd, er cenedlu,
Mwy o gariad rhwng pob un;
Henffych undeb, &c.,
Ti yw'n coron, ti yw'n grym.

## TESTUNAU AMRYWIOL.

---

**117** M. N. 8, 7, 4.

Daw y Barnwr yn ei gerbyd,
Udgyrn fyrdd a gân o'i flaen;
Cyd ymgasgla'r meirw cysglyd,
Oll gerbron yr orsedd lân.
Haleliwia, &c.,
Groesaw anwyl Grist o'r nef.

Gorfoledda y ffyddloniaid,
A'u llawenydd fydd yn llawn;
Daw eu Prynwr mawr bendigaid,
A'u Gwaredwr anwyl iawn:
Haleliwia, &c.,
Gwisgant eu coronau hardd.

**118** M. C. C.

Fy etifeddiaeth werthfawr yw,
Gwir eiriau'r Duw tragwyddol;
Melysach yw eu nefol rîn
Nâ'r melys win i'w bobl.

Troir eu wylofain trist yn gân,
Ar lwybr glân ei ddeddfau;
Mor werthfawr yw eu bywiol rîn,
Mewn cystudd blin a chroesau.

119 M. H.

A all y fraich a wnaeth bob dim
Ddiffygio byth, neu fyn'd heb rym?
A balla nerth y cadarn Iôr
A wnaeth y nef, y tir, a'r môr!

Nerth dyn yn fuan a wanha,
A chryfder ie'nctyd blino wna;
Ond nerthoedd anchwiliadwy sy
Yn mythol freichiau'n Harglwydd ni.

Y saint ymadnewyddu wnant,
Can's derbyn nerth o hyd a gânt,
Nes cyrhaedd y dedwyddol dir,
Lle mae digrifwch bythol pur.

120 M. C. C.

Aaron, â gwaed nid eiddo'i hun,
Unwaith bob blwyddyn safai;
O flaen y drugareddfa wiw,
Am gymmod Duw ymbiliai.

Gwaed newydd beunydd yn ei bryd
Gynt gollid ar allorau;
Ond yr un offrwm ddygodd Crist
Dawela drist galonau.

Iesu, ein Harchoffeiriad byw,
Saif o flaen Duw'n wastadol,
I ddangos ei rinweddol waed,
A dwyn rhyddhad i'w bobl.

I eiriol fry gerbron y Tad,
Yn wastad mae'n ymddangos;
Rho'th gwyn, fy enaid, i ddo ef,
Mae n siwr o ddadleu'th achos.

121 M. H.

Dechreuaist, Arglwydd, ein rhyddhau,
A'th lid sy'n llai tuag atom 'nawr;
Tro'n calon atat yr un pryd,
Cyflawna'th iechydwriaeth fawr.

Bywha ein grasau â dy ddawn,
Ac ynot llawenhaed dy blant;
Hysbysa'th wir a'th gariad llawn,
A'th foli wnawn, mae arnom chwant.

Dysgwyliwn beth a ddywed Duw,
Fe draetha hedd i'w saint o'r nef;
Ond peidiwn mwy o'i ffyrdd ef droi,
Rhag ail-gyffroi'i ddigofaint ef.

122 M. C. C.

Na chudd dy wyneb, Arglwydd da,
A'm henaid na thro ymaith;
Duw f'einioes wyt, ac atat dof,
Mewn dydd o brofedigaeth.

Pe bai i geraint agos cu
Fy ngado i drengu o eisiau,
Fe gofiai Duw am danaf fi,
Cyflawnai fy holl reidiau.

O saint, ymro'wch, na fyddwch swrth,
Dysgwyliwch wrth Dduw'n wastad;
Pan laeso'ch hysbryd, fe'i cryfha
Yn amgen na'ch dysgwyliad.

**123** M. N. 8, 7. 4.

Archodd Duw i'w lân angylion,
Fyw yn Seion efo'i saint;
Gan ei gwylio yno'n unol,
Rhag uffernol hudol haint:
Mor ddymunol, &c.,
Ac hyfrydol ydyw'r fraint.

Gwrendy'n fwyn ar gwyn y gweinion,
Mewn trallodion clyw ei lef;
Mae'n gwaredu'r sawl a gredo,
Pan y galwo arno ef;
Haleliwia, &c.,
Dyma ddiddos noddfa gref.

**124** M. N. 8au.

Fy enaid, cred, anghofia'th adfyd,
Edrych i'r ardaloedd hyfryd;
Ehed o'r byd sy'n fôr o drallod,
Y mae gwleddoedd i ti'n barod.

Dacw'r gwledydd hyfryd helaeth,
Roddwyd i mi'n etifeddiaeth;
Lle mae cariad pur yn llifo,
Heb byth drai na therfyn iddo.

Dacw'r fan y caf deyrnasu,
Gyda'm hanwyl Brynwr Iesu :
Gwledda o'i gariad, gwel'd ei wyneb,
I ddiderfyn dragwyddoldeb.

## 125 M. C. C.

Gogoniant byth i'r anwyl Un
A dynodd golyn angeu ;
Yspeiliodd uffern fawr ei grym,
A rhyddion ydym ninnau.

Gorchfygodd Iesu un prydnawn,
Y ddraig a'i llawn gynllwynion,
A'i waed a roddodd i'n glanhau,
A'n cânu ninnau'n wynion.

Chwi sereiph a cherubiaid glân,
Eich dawn rhowch allan iddo ;
Y ddwyfol law a'n cododd ni,
A'ch cadwodd chwi rhag syrthio.

## 126 M. N. 8, 7.

Oni chlywsoch ? oni chlywsoch ?
Onid ydych oll yn llon ?
Oni chlywsoch ddadguddiadau
Mawr yr oruchwyliaeth hon ;
Anerch yw i'r holl genedloedd,
Rhybydd dwys i bob dyn byw ;
Byddwch barod, byddwch barod,
I gyfarfod gyda'ch Duw.

127 M. H.

Y dedwydd ddydd a ddaeth i ben,
I'r angel ddod o entrych nen,
Ac yn ei law'r efengyl fawr,
Yn anrheg nef i'r ddaear lawr.

Sa'n nddgorn hedd yn awr a ddaeth,
I lwyr ryddhau'r trueinus caeth;
O brysia, brysia ddedwydd ddydd,
Pan Iesu'n frenin daear fydd.

O'r diwedd daeth i saint ein Duw,
Holl lais eu Iesu ar eu clyw;
Ac angyl nef, oruchel fraint,
I gymdeithasu gyda'r saint.

---

## YMADAWIAD.

---

128 M. N. 8, 7.

Rhaid ymadael unwaith etto
A'n cyfeillion cyfiawn cu;
Iesu, na 'madawed d' Ysbryd
Byth ag un o honom ni:
Dyro hwn i'n tywys beunydd,
Trwy ein dyrus anial daith,
Nes cyrhaeddom wlad y gwynfyd,
Yn y tragwyddolfyd maith.

**129** M. N. 7, 6.

Er cystal yw cyfarfod
 A'n gilydd ar y llawr,
Mae'n rhaid ymadael etto,
 Mewn gobaith gweld yr awr,
Y cwrddwn oll yn Seion,
 Oddeutu'r bwrdd heb boen,
I ganu anthem Moses,
 A pheraidd gân yr Oen.

**130** M. N. 8, 7, 4.

Dan dy fendith wrth ymadael,
 Y dymunem, Arglwydd, fod;
Llanw'n calon â dy gariad,
 A'n geneuau â dy glod:
Dy dangnefedd, &c.,
 Dyro i ni yn barhaus.

**131** M. H.

Ymadael 'rym, O Arglwydd mawr;
O rho dy law bob mynyd awr,
I deithio camrau byr ein hoes,
Dan garu'r Gwr fu ar y groes.

**131** M. C. C.

Er 'madael 'nawr, O Arglwydd ne',
 Bob un i'w le trigiannol,
O dan dy wên heddychol di
 Y byddom ni'n wastadol.

133 M. N. 7, 4.

Frodyr a chwiorydd cu,
'Fewn yr undeb,
Er mor hoff yw genyf fi
Wel'd eich wyneb,
Rhaid ymadael; ond ni awn,
Mewn llawenydd,
Dan fwynhad o ddysg a dawn
Ein Dyddanydd.

Hwn aroso gyda ni
Yn dragywydd:
Ernes yw o'r deyrnas fry,
Medd yr Arglwydd.
Y Dyddanydd hwn a fo
Yn ein meddiant,
Nes meddiannu nefol fro
Y gogoniant.

J. Davis, Argraffydd, Merthyr.